# "EMPRESSES" YR ATLANTIC.



**R.M.S. "Empress of Britain" a'r "Empress of Ireland"** (14,500 o dunelli ; 18,000 h.p.).

---

**Yr Agerlongau Harddaf a Chyflymaf i Ganada. Dim ond Pedwar Diwrnod ar y Mor Agored.**

---

Mewn cysylltiad uniongyrchol a'r Canadian Pacific Express Trains i bob parth o Ganada.

Cyfarfyddir ymfudwyr yn Lerpwl gan Swyddogion y Canadian Pacific, a chludir hwy i ben y daith gyda thocyn y Canadian Pacific.

Cymerir gofal arbenig o Wragedd a Phlant.

---

*Am fanylion pellach ymofyner —*

C. J. CUDLIPP,
32 City Road, CARDIFF.

# Canadian Pacific.



# Gwaith a Chyflogau

YN

# CANADA,

GYDAG

## Arweiniad i Ymfudwyr a'r ffordd oreu i deithio.

Gwelwch fod eich Tocyn ar y Rheilffordd yn darllen "gyda'r C.P.R."

# Y FFORDD I FYN'D I CANADA.

## ARWEINYDD I YMFUDWYR,

**PA ADEG A'R LLE I FYNED, &c.**—Yr amser goreu i adael Prydain ydyw diwedd mis Mawrth neu ddechreu Ebrill, gan fod gwaith yn debyg o fod yn brin yn y gauaf. Rhaid i ymfudwyr fydd yn myned i Canada rhwng Rhagfyr y 31ain a Chwefror 15fed fod yn feddianol ar $50 (£10) a rhwng Chwefror y 15fed a Rhagfyr 31ain $25 (£5), heblaw digon i dalu eu cludiad ar y rheilffordd i ben y daith, neu ddangos i'r swyddogion mudiadol eu bod yn myned i waith wedi ei sicrhau iddynt, neu y gofelir am danynt gan ffryndiau. Os yn ansicr o'r lle i fyned yn Canada, pryuwch docyn i Winnipeg yn Manitoba, Toronto yn Ontario, neu Vancouver neu Victoria yn British Columbia, y llefydd hyn ydyw y rhai mwyaf canolog i gael pob hysbysrwydd. Cedwir lle ar y llong trwy dalu £1 yn mlaen llaw a'r gweddill o'r arian cludiad i'w talu rhyw wythnos cyn hwylio. Rhoddir rhybudd printiedig gyda'r tocyn yn rhoddi amser mynediad i'r llong neu fe'u danfonir trwy y *post* ychydig ddiwrnodiau cyn amser hwylio.

**AGERLONGAU.**—Y mae agerlongau y llinellau i Canada yn gadael Porthladdoedd Prydain bob wythnos am Quebec a Montreal (Porthladdoedd haf), ond yn dechreu yn gynar yn Tachwedd, rhed yr Agerlongau i St. John, N.B. Yn mhob un o'r Porthladdoedd yn Canada gwneir cysylltiad a cherbydresi (*trains*) y Canadian Pacific Railway. Pan yn codi tocyn, dylai teithwyr wneud yn sicr fod eu tocyn ar y rheilffordd yn darllen "gyda y Canadian Pacific Railway." Anfonir (*bills*) yn rhoddi adegau hwylio oud gwneyd cais am danynt. Yn yr haf glenir teithwyr y trydydd dosbarth (*3rd Class*) yn Quebec, ac yn ystod y gauaf yn St. John, N.B.

**GWAITH AR FFERMYDD.**—Ar ol cyrhaedd Winnipeg dylid gwneud cais at Ddirprwywr Ymfudiaeth perthynol i'r Llywodraeth (*Commissioner of Emigration*) yn swyddfa (*office*) pa un y mae ffermwyr yn cofrestru eu angenrheidiau, neu os yn myned i Toronto, dylai ymfudwyr wneud cais at Swyddog Ymfudiaeth perthynol i'r Llywodraeth yn yr Union Station, Toronto, am waith ar fferm, neu am waith teuluaidd i ferched. Er mwyn bod yn gyfleus i ymfudwyr yn myned i Ontario deithio yn union o'r cartrefleoedd yn Mhrydain i'r Sir yn Ontario, lle mae gofyn am eu gwaith, mae y Llywodraeth wedi penodi dau gant o Oruchwylwyr Gweithiol trwy y gwahanol Siroedd yn Ontario, lle y mae

**Gwelwch fod eich tocyn ar y rheilffordd yn darllen "gyda'r C.P.R."**

gofyn am Weision ffermwyr. Rhoddir rhestr o'r rhai hyn i bob *Booking Agent* dros Agerlongau y Canadian Pacific.

Ymfudwyr yn myned i Ontario am waith ar ffarm, gallent fel hyn *godi eu tocynau gyda y Canadian Pacific i'r lle y maent yn bwriadu myned.* Yn British Columbia ymofyner a'r *Bureau of Provincial Information, Victoria.*

DYNION HEB WYBODAETH AM FFERMIO.—Y maent yn aml yn chwilio am waith, gyda chyflog bychan gyda ffarmwr Canadaidd, er mwyn enill gwybodaeth a dysgu ffordd y wlad cyn dechreu ar eu cyfrifoldeb ei hunain. Dynion dibrofiad o waith ffarm, ni ddylant fyned allan yn gynt na mis Mawrth, a dylent ymgynghori a'r *Booking Agent* lleol am y lle i fyned yn Ontario, neu godi tocynau yn uniongyrchol i Winnipeg, Vancouver neu Victoria British Columbia. *Rhoddir Cyflogau uchel i ddynion da a'r ffermydd.* Yn Quebec, Montreal, Halifax, St. John, N.B., Port Arthur, Winnipeg, Brandon, Regina, Dauphin, Prince Albert, Lloydminster, Sedgewick, Lethbridge, Calgary, Edmonton, etc., mae yma neuoedd lle y gall ymfudwyr letya yn rhad am amser penodedig. Gellir prynu bwyd yn rhad oddiallan a'i goginio yn y neuoedd.

ARIAN CLUD *(Fares)*. Nid oes cludiad rhad nac unrhyw gynorthwy i'w gael. Rhaid talu y llawn *Fare* cyn gadael Prydain. Dylai teithwyr brynu eu tocynau trwodd gan fod y gost yn fwy i brynu tocynau yn Canada ar y rheilffordd. Nid yw tocynau rheilffordd trefedigaethwr *(colonist)* yn caniatau iddynt aros drosodd i'r *stations* yn Manitoba, Saskatchewan ac Alberta (a'r Dwyrain o British Columbia.) Prisiau o Lerpwl, yn cynwys rhydd-docyn *3rd Class* o Lundain i Lerpwl, fel y canlyn (ond yn ddarostyngedig i gyfnewidiad):—

| | | 3rd Class ar y Llong a Cerbyd Trefedigaethwr ar y Rheilffordd. | | | | 2nd Class ar y Llong a Cerbyd Trefedigaethwr ar y Rheilffordd. | | |
|---|---|---|---|---|---|---|---|---|
| | | £ | s. | d. | | £ | s. | d. |
| *Brandon | o | 9 | 15 | 8 | ... | 13 | 0 | 8 |
| Calgary | „ | 11 | 5 | 0 | ... | 14 | 10 | 0 |
| Edmonton | „ | 11 | 13 | 2 | ... | 14 | 18 | 2 |
| Lloydminster | „ | 11 | 7 | 1 | ... | 14 | 12 | 1 |
| Regina | „ | 10 | 5 | 0 | ... | 13 | 10 | 0 |
| Saskatoon | „ | 10 | 12 | 6 | ... | 13 | 17 | 6 |
| Toronto | „ | 7 | 8 | 7 | ... | 10 | 13 | 9 |
| Vancouver | „ | 13 | 18 | 7 | ... | 17 | 3 | 7 |
| Victoria | „ | 14 | 5 | 3 | ... | 17 | 10 | 3 |
| Winnipeg | „ | 9 | 10 | 0 | ... | 12 | 15 | 0 |

Rhoddir prisiau i *Stations* eraill ar gais.

*Y mae y prisiau hyn yn sylfaenedig ar y pris gydag agerlong y Canadian Pacific "Lake Manitoba." Rhoddir prisiau gyda yr agerlongau eraill ond gwneuthur cais am hyny.

**Gwelwch fod eich tocyn ar y rheilffordd yn darllen "gyda'r C.P.R."**

**TIR.**—Rhoddir 160 o aceri (erwau) o dir yn rhydd gan y Llywodraeth i bob gwryw (*male*) deunaw oed neu drosodd. Gellir prynu tir rhagorol yn agos i farchnadoedd gan y Canadian Pacific Railway, ei werth i'w dalu i lawr mewn arian, neu mewn man-daliadau yn flynyddol. fel ei desgrifir yn y llyfr *Western Canada.* Y mae tir y Canadian Pacific Railway yn cynhwys pob darn digymar (*odd-numbered*) ar hyd y prif Linell a'r Cangenhau, yn ardaloedd Lake Dauphin, yn Manitoba, a Saskatchewan yn Ngogledd Alberta. Y mae y rhai hyn ar werth, eu prisia yn rhestru o $5 i $20 yr acer (erw)

Prisiau tir at Haid-amaethu (*ranching*) yn rhestru o $6 i $8 yr acer, a tir cyfaddas i dyfu grawn (*grain*) neu ffarmio cymysg o $8 i $20 yr acer, yn dibynu ar ansawdd ei sefyllfa. Nid ydynt ar werth yn Mhrydain. Y mae y gwerthiad yn aros gyda F. T. Griffin, Dirprwywr Tir, *Land Commissioner* (C.P.Ry.), Winnipeg, yn swyddfa pa un y mae rhestriad a desgrifiad i'w gael o bob rhan, yn dangos y Coed, Dwfr, etc., sydd arno, a'r cymhwysiad sydd ynddo, pa un ai i dyfu grawn (*grain*) neu i Haid-amaethu, neu i Ffarmio cymysg. Y mae tir yn cael ei gynyg gan Dalaeth Ontario, yn ddarnau 160 o aceri (erwau) perffaith rydd yn ardaloedd Rainy River Valley, Wabigoon, a Thunder Bay; ac am 50 *cents* 2/6 yr acer, i'w talu mewn man-daliadau, yn Southern Nipissing, Temiskaming, a rhanau o Ardal Algoma; yn ddarostynedig yn mhob achos i'r amodau sefydliad arferol. Y mae y tir hwn o dan goed ac y mae y coed ddefnydd yn werthadwy bob amser yn y Gymydogaeth. Ceir hysbysrwydd am y tir yma ond anfon cais i'r Director of Colonization, Toronto, Ontario.

Mae Llywodraeth British Columbia yn caniatau rhag-bryniad o 160 o aceri (erwau) am y pris isel o $1 yr acer (erw), taliadau yn ymdaenu dros chwe' blynedd. Gellir prynu tir gan y Llywodraeth can uched a 640 o aceri yn ol $5 yr acer am diro'r radd oreu, a $2·50 am dir o'r ail radd.

Hysbysrwydd i'w gael ond gwneud cais i Ddirprwywr y Tir a Gwaith (*Commissioner of Lands and Works*), neu i'r *Bureau of Provincial Information Victoria. B.C.*

**CYFLOGAU GWEISION FFERMYDD, LABRWRS, MERCHED GWEINI, CREFFTWYR, A GWEITHWYR MEWN FFATRIOEDD, &c.**—

**Dwylaw ar y Ffermydd—(gwryw)**—Cyflogau gyda bwyd a llety. *Manitoba*, $20 i $30 y mis a bwyd yn ystod yr haf, o $5 i $15 yn y gauaf. *Alberta* a *Saskatchewan*, yn ystod yr haf $20 i $25 gyda bwyd. *British Columbia*, $25 i $45; *Ontario*,

*Dalier Sylw · Y mae $1 dollar yn gyfartal i 4s. 1½c., a 1 cent i ½c.*

**Gwelwch fod eich tocyn ar y rheilffordd yn darllen "Gyda r C.P.R."**

$20 i $30 y mis gyda bwyd, yn ystod yr haf, $10 i $20 yn y gauaf. *New Brunswick* a *Nova Scotia* $15 i $25 gyda bwyd o Mai i Tachwedd. Yn ystod y cynhauaf telir i ddynion da yn *Manitoba*. *Saskatchewan* ac *Alberta* i fyny i $45 y mis a bwyd. *British Columbia*, $30 i $45 y mis gyda bwyd; *Ontario*, $30 i $40 y mis gyda bwyd. Wrth ymrwymo am flwyddyn, gyda bwyd a golchi —*Ontario* $200 i $300 i ddynion profiadol, dibrofiad $100 i $125; *Manitoba* $200 i $300, *Saskatchewan* $200 i $300; *British Columbia*, $240 i $350; *New Brunswick*, $150 i $225. Gwr a gwraig (*married couples*) derbyniant os o'r radd gyntaf fel dwylaw ar ffarm, yn *Ontario* tua $275 i $375 yn flynyddol, gyda ty a gardd, llefrith, a choed tan, ond heb fwyd; yn *Manitoba* a *Saskatchewan* i $400 hefo llety.

**MERCHED GWEINI AR FFARM.**—Cyflogau y mis gyda bwyd a lletty. *Manitoba*, $7 i $12, *Saskatchewan* a *Alberta*, i fyny i $15; *British Columbia*, $15 i $40.

**MERCHED GWEINI MEWN LLEFYDD PREIFAT.**—Ceir digonedd o lefydd yn barod gyda cyflogau da a chartrefi cysurus, trwy yr oll o Canada ar unrhyw adeg. Cyfarfyddir yr Agerlongau yn Quebec gan *matrons* y Llywodraeth, a rhoddir hysbysrwydd i'r *Women's National Immigration Society, 87, Osborne Street, Montreal*, cyfarfyddir y merched yn Montreal, a rhoddir derbyniad iddynt i'r Cartref yn Montreal, lle y gallent aros heb unrhyw dal am bedair awr ar hugain, ac ar ol hyny codir tal o 12s yr wythnos neu 2s. y dydd am fwyd a lletty. Hefyd rhoddir telerau rhywbeth tebyg gan yr Andrew's Home, 46, Belmont Park, Montreal, a'r Girls' Home of Welcome, 130, Austin St., Winnipeg. Manitoba. Mae Gwesty Croesawiad i Ferched (*Women's Welcome Hostel*) wedi ei sefydlu yn 66, Wellesley St., Toronto, lle y gall merched gyda chymeriad da gael derbyniad, a bwyd a lletty yn rhad am bedair awr ar hugain, ar ol hyny 2s. y dydd. Cymerer yr *electric car* o'r Station. Parties o dan amddiffyniad, neu os anfonir *telegram* gan Swyddog Ymfudiaeth yn Montreal, cyfarfyddir hwy gan yr ysgrifenydd. Mae Gwesty wedi ei sefydlu yn Halifax, N.S., er mwyn derbyn a lletya merched gweini, lle y maent dan arolygiaeth y matron, a gofelir am ferched ieuainc hyd nes y byddont wedi eu rhoi mewn lle cyfaddas. Yn 1267, Robson Street, Vancouver, mae yna Y.W.C.A. (*Young Women's Christian Association*) lle y gall merched gael bwyd a llety am 13s. i 16s. yr wythnos. Yn Victoria, B.C., mae gwesty wedi cael ei sefydlu, lle y geill merched gyda cymeradwyaeth gael derbyniad a chwilir am lefydd iddynt yn rhad; cyfeiriad, "Y.M.C.A., Pandora Avenue, Victoria, B.C." **Cyflogau wrth y mis gyda bwyd a llety**: Montreal, Cooks, $12 to $20, Tablemaids, $11 i $16; Housemaids, $10 i $12; Merched gweini yn

Ontario, $8 i $12; Mewn tai yn y wlad ac ar ffermydd, yn Ontario ar trefydd yn Ontario, yr un cyflogau a Montreal; Manitoba, Sascatchewan, ac Alberta, $10 i $20. Derbynia Cooks, yn Sascatchewan a Alberta $20 i $25, yn British Columbia maent yn neillduol o brin, $15 i $35. **Milliners, a Dressmakers** oddigerth yn Victoria a Vancouver y cyflenwad yn gyfartal a'r gofyniad. Vancouver a Victoria, Dressmakers, $1 i $2 y dydd a bwyd. **Factory Hands** Mae y cyflenwad lleol yn y rhan fwyaf o'r llefydd yn gyfartal a'r gofyniad. Mae yna felinau Cottwm a Gwlan yn Stormont, Cornwall, Valleyfield (Quebec), Hamilton, Toronto, Montreal, Ottawa, Halifax, Milltown (New Brunswick). Cyflogau sydd yn cael eu talu (ar gyfartal wrth y darn). Merched (Nyddwyr a Gwehyddion) yn St. John, N.B., $1 y dydd; Trefydd yn Ontario, merched mewn ffatrioedd, $4 i $8 yr wythnos; Montreal, merched (gwehyddion) $4½ ac i fyny yr wythnos. Mewn ffatrioedd gwneud dillad, yn Montreal, Toronto, a Hamilton, cyfartaledd cyflogau merched $4 yr wythnos, iselaf $3, uchaf $8. *Sewing Machinists Fancy Box Makers, Book Folders, Book Sewers. Steam Laundresses, Umbrella Hands* $3 i $7 yr wythnos. Oriau gweithio i ferched o 45 i 50 yr wythnos; ond yn y ffatrioedd Cottwm a Nyddu, amser 52 i 60 awr yr wythnos. **Stockmen ar y Ranches**—Cyflogau i ddynion profiadol. Manitoba, Sascatchewan, a Alberta, $20 i $25 y mis; *Foremen*, $35 ac uchod, ychydig o ofyn. Gwr a Gwraig ar y *ranches*, y wraig fel cook, a'r gwr i weithio, $25 i $40 y mis. *Boundary Riders* yn McLeod, Alberta, $20 i $40 y mis gyda bwyd a lletty. **Defaid neu Anifeiliaid**—Mae yna agoriadau oddi amgylch y trefydd yn Ngorllewin Canada i fagwyr defaid, a magwyr gwartheg i gyflenwi y Llaethdai.

**Garddwyr a Garddwyr Marchnadol.** (*Gardeners*). Y mae yna agoriadau da i Arddwyr Marchnadol, (*Market Gardeners*), hefo peth cyfalaf yn agos i Winnipeg, Victoria, Vancouver, a trefydd mawrion trwy ddwyreinbarth Canada, a Cape Bretton, N.S., Ontario, $1 i $1¼ y dydd, gofyn da am danynt yn y Gwanwyn yn unig. Winnipeg, Manitoba, $1 i $1¼ y dydd a bwyd; Sascatchewan, ac Alberta, a British Columbia, $25 i $40 y mis a bwyd; gofyniad yn y gwanwyn, New Brunswick a Quebec (Montreal) $12 i $20 y mis a bwyd; Nova Scotia, $1 i $1¼ y dydd a bwyd. **Crefftwyr** (*Mechanics*) am ba rai mae gofyn da trwy Canada, ond yn fwy cyffredin yn y gwanwyn a'r haf, am ddynion i adeiladu, yn enwedig *Carpenters*. Dynion cyfarwydd megis carpenters, bricklayers, masons, painters, paperhangers, lathers, plasterers, metal workers, stonecutters, boiler makers, shipwrights, cyclemakers, waggon makers, coopers, etc. Nid oes dim anhawsder i gael gwaith, llai o ofyn yn y gauaf. Y mae nifer fawr o ddynion yn gweithio yn y Gweithfeydd Dur yn Sydney, Nova Scotia, ac yn Hamil-

ton, a Sault St. Marie (Ontario). Yn y Talaethau dwyreiniol, cyflogau crefftwyr y dydd heb fwyd, $1½ i $2½; Manitoba, $2 i $3½; Saskatchewan, Alberta, a British Columbia; $3 i $4. seiri meini a seiri bricks, *masons and bricklayers* 50 cents i $1 y dydd yn fwy yn mhob achos. Yn Winnipeg a Calgary (7 i 8 mis o dymhor), seiri meini a seiri bricks, 55 cents yr awr; seiri coed, 45 cents; bricklayers yn British Columbia, seiri coed, $3½ i $4½ y dydd; plumbers, 40 i 45 cents yr awr; plastrwrs, $5 y dydd (wyth awr y dydd); Toronto, seiri coed, 33 cents yr awr; Quebec, 20 cents; Halifax, N.S., $2½ y dydd; seiri bricks, *bricklayers*, yn Montreal. 45 cents yr awr; Hamilton a Ottawa, (naw awr y dydd). 47 cents; Toronto (wyth awr y dydd), 47 cents; seiri llongau (*shipwrights*) yn British Columbia, $4 i $5½ y dydd (10 awr), a $3 y dydd yn St. John, N.B. **Argraphwyr** (*Printers*), cyfartaledd cyflogau i gysodyddion dwylaw (*hand compositors*) yn Halifax, $1·80 ac yn St. John, N.B. $2, yn Montreal, $2·08, yn Toronto, $2½, yn Winnipeg a Victoria, B.C. $24 i $27 yr wythnos, cyflogau i rai yn gweithio gyda y peirianau ychydig yn uwch: oriau arferol, 9 awr y dydd, ond yn y rhan fwyaf o achosion wedi eu tynu i lawr i 8. **Labrwrs cyffredin a Navvies.** Gofyn da am danynt yn y gwanwyn a'r haf. Dwyrain Canada, $1·50 i $2; Manitoba a'r Gogledd-Orllewinol, $1·75 i $2·25 heb fwyd; labrwrs yn British Columbia, $1·50 i $2·50 y dydd. **Gofyn da am ddynion i adeiladu rheilffyrdd Longshoremen** yn Montreal, 25 cents yr awr, wrth y dydd, am lwyth cyffredin, a 30 cents yr awr wrth weithio y nos; Vancouver, a Victoria, B.C., 40 cents yr awr yn y dydd a 50 cents y nos, **Coachmen a Grooms** $10 i $15 y mis a bwyd yn y trefydd mawr megis Ottawa, Montreal, etc. **Coal Miners** mwnwyr wedi ymarfer, mae gofyn da am danynt yn Nova Scotia a British Columbia. Yn Nova Scotia cyflogau llwythwyr $1·28 i $1·52 y dydd. Naddwyr glo, 30 cents y dunell, gyda y peirianau, a 46 i 54 cents gyda llaw. Yn Alberta, a Lethbridge, Lundbreck, Frank, Lille, Hillcrest, Blairmore, Bankhead, a mwnau yn ngyffiniau Edmonton: Dynion profiadol, cyflog lleiaf, $3 y dydd; wrth gytuno, *contract* $3 i $5; labrwrs. $2·50. Nanaimo, B.C., mwnwyr, $3 i $5; labrwrs, $2 i $2·50 y dydd; bechgyn, $1½, i $2 y dydd. Yn y Crow's Nest Pass, mwnwyr, $3 i $4 y dydd; labrwrs $2 i $2·50 y dydd. **Mwnwyr Aur.**—Yn ardal Kootenay, British Columbia, $3 i $4 y dydd, o wyth awr; (gwaith yn unig i ddynion wedi ymarfer). Mwnwyr Aur: Nova Scotia, $2½ y dydd; British Columbia, $3 i $4 y dydd. Tiriogaeth yr Yukon, $4½ i $6 y dydd a bwyd, y gost i fyw yn uchel; labrwrs yn y mwnau $2½ i $3 y dydd, wyth awr o dan y ddaear, 9 i 10 ar y top.

**Gwelwch fod eich tocyn ar y rheilffordd yn darllen**

**"gyda'r C.P.R."**

**SWYDDFEYDD GWAITH A GORUCHWYLWYR TIR.**—**New Brunswick**—4, Church Street, St. John. **Nova Scotia**—Department of Industry and Immigration, Halifax. **Quebec**—Dominion Immigration Agency, 306, St. Antoine Street, Montreal; Free Municipal Labour Bureau, Montreal; Andrew's Home, 46, Belmont Park, Montreal; Women's National Immigration Society, 87 Osborne Street, Montreal, a Quebec; **Ontario**—Superintendent of Immigration, 138, Queen Street, Ottawa; Women's Welcome Hostel, 66, Wellesley Street, Toronto; neu Ontario Immigration Department, Provincial Government, Toronto. **Manitoba**—Commissioner of Immigration, Winnipeg; Girls' Home of Welcome, 130, Austin Street, Winnipeg. **Alberta**—Y.W.C.A. 222, 15th Avenue, Calgary; 526, 3rd Street, Edmonton. British Columbia—Swyddogion y Llywodraeth Dalaethol yn Kamloops, Golden, Nelson, Revelstoke, Vernon, Nicola, New Westminster, Ashcroft, neu yn Victoria, a'r Tourist Association, 633, Granville Street, a'r Y.W.C.A., 1267, Robson Street, Vancouver.

Mae Tir Swyddogion wedi eu sefydlu yn Alameda, Battleford, Brandon, Calgary, Dauphin, Edmonton, Lethbridge, Prince Albert, Red Deer, Regina, Winnipeg, Yorkton, Moosejaw, Humboldt, Kamloops, New Westminster, etc.

---

*SYLWER.—Nid yw cyflogau uchel yn arwyddo angen bob amser am weithwyr. Ceir hysbysrwydd cyffredin gan swyddfeydd y Canadian Pacific Railway yn Mhrydain, neu trwy y Goruchwyliwr (agent) ag sydd a'i enw ar y llyfr hwn.*

---

**TRI CYNGHOR.** — Rhaid i chwi fod yn barod i weithio yn galed. "Does yna ddim pobl hamddenol yn Canada; mae pob un yn weithwyr. Dylech ochel dyeithriaid, a gwneud ymholiad a swyddogion tir, neu swyddogion ymfudiaeth y Llywodraeth. Chwi ddylech, yn enwedig os bydd eich teulu gyda chwi, fod ganddoch ddigon o arian yn eich poced ar ol glanio, i gyfarfod a'r draul angenrheidiol i drafaelio, a dros yr amser rhwng yr adeg y byddwch wedi glanio a'r adeg y dechreuwch weithio ac enill arian; a dylech gelu rhag dangos eich adnoddau i eraill.

Dylech fod yn bur ofalus i beidio prynu nac ardrethu tir gan bersonau nad ydych yn gwybod dim am danynt—hyd nes y byddwch wedi edrych dros y tir eich hunan, a cael cynghor annibynol.

**DILLAD CYFADDAS I YMFUDWYR.**—Nid yw yn angenrheidiol myned a helaethdra o ddillad neillduol, ac nid yw yn ofynol iddynt fod yn newydd; dylai ymfudwr fyned a'i hen ddillad i gyd. Ymfudwyr a chanddynt gyllill, ffyrch, llwyau, gwelyau a llieiniau bwrdd, llestri cegin, peirianau gwnio, a tools ysgafn, a manion bethau eraill, ac addurniadau (ornaments) dylid eu cymeryd, ond nid dodrefn trwm, neu

**Gwelwch fod eich tocyn ar y rheilffordd yn darllen "gyda'r C.P.R."**

harnais, nac unrhyw offerynau amaethyddol cyffredin, gan fod rhydd-gludiad penodedig. Gwell ydyw prynu y pethau hyn yn Canada. Dylai ymfudwyr fyned a'r cwbl o'r dillad sydd ganddynt, ond, os yn bosibl, dim llai na'r canlyn:—
**I Ddynion.**—(1) I'w gwisgo ar y fordaith: Un suit gref, un par o esgidiau (nid ydyw esgidiau hoelion mawr yn cael eu gwisgo yn Canada), topcoat dew, cwrlid (rug) cap cynes, ysgablar (scarf), dillad isaf, cadechi poced (handkerchiefs), toweli, a cwd sach llian cryf. (2) I'w gwisgo ar ol cyrhaedd Canada: Siwt arall o ddillad, par o esgidiau, a thri neu bedwar o'r gwahanol bethau, mewn dillad isaf.—
**I Ferched.**—(1) I'w gwisgo ar y fordaith: Un wisg (dress) gynhes, un par o esgidiau, un mantell dew neu siaced, cwrlid (rug) neu blanced, ysgablar wlanog (woollen scarf), a menyg, a het yn ffitio yn dynn. Dillad isaf: Cadachau poced (handkerchiefs), defnyddiau gwnio, toweli (a cwd sach-lian). (2) I'w gwisgo ar ol cyrhaedd: Gwisg gynhes arall, par o esgidiau, dwy wisg gottwm, dwy wisg brint, a gwisg ddu blaen os bydd yr ymfudwr yn myned i weinidogaeth deuluaidd, tri neu bedwar o'r gwahanol bethau mewn dillad isaf, cadachau poced, a toweli.—**I Blant.**—Dillad cynhes, mantell, esgidiau, a tri neu bedwar o'r gwahanol bethau i'w newid ar y fordaith ac ar ol glanio. Mewn dillad isaf: Dau neu dri o grysau gwlanen i ddynion, a bydd cyflenwad o wlaneni i ferched a phlant yn ddefnyddiol.



Edrych allan o Ffenestri Cerbyd y Trefedigaethwr (Colonist Car).

## Rheilffordd Wasanaeth y Canadian Pacific.

MAE y linell hon wedi ei hadeiladu yn berffaith ac wedi ei haddurno yn ardderchog, fel ag y mae hi wedi enill cymeriad am ei chysurdeb a'i hamser rheolaidd, nad oes ond ychydig linellau yn yr America wedi ei gyrhaedd.

**ADDURNIAD.**—Mae y linell wedi ei haddurno a'r cerbydau teithwyr goreu yn y byd. Mae yr olwynion ac sydd yn cael eu harfer o dan y cerbydau hyn wedi eu gwneud o Krupp steel, ac nid oes un erioed wedi ffaelu; mae yr echeli wedi eu gwneud o ddur, ac o'r un maintioli a'r echeli haiarn sydd yn cael eu harfer ar linellau eraill. Mae cyrph y cerbydau wedi eu cydgysylltu yn gryf fel ac i gyfarfod ag unrhyw ddamweiniau, ac yn llotach ac yn uwch na'r rhai ar unrhyw reilffordd arall.

**MAE Y MOESGARWCH A'R GWEINYDD-DRA** sydd yn cael eu harfer gan weinidogion y Cwmpeini yn cael son am dano gan bob teithiwr ar y llinell. Y mae glanweithdra y cerbydau a'r gorseddfaoedd i'w sylwi. Dyma y ddau bwnc nesaf i ddiogelwch ac mae y Cwmpeini yn eu gwylied yn ofalus.

**GOFAL.**—Y mae pob cymhwysiad ac sydd wedi ei brofi yn gyfrif werth i ddiogeliad yn cael ei arfer yn y llinell hon. Y maent yn rhy luosog i'w henwi, ond y maent yn cynwys trefniad gochelgar wrth yr oll o'r pontydd. Mae gofal arbenig wedi cael ei wneud a'r offerynau twymo i fod yn hollol ddiogel ar y trains.

**Gwelwch fod eich tocyn ar y rheilffordd yn darllen "gyda'r C.P.R."**

**BWYD A CHYSGU AR Y DAITH.**—Mae bwyd a phob dim angenrheidiol yn cael ei ddarpar ar fwrdd y llongau yn croesi yr Atlantic, ond tal teithwyr tua swllt yr un am bob pryd, wrth y bwrdd pryd, yn ystod y tri diwrnod y bydd yn teithio ar y rheilffordd rhwng y Porthladd y bydd yn glanio a Winnipeg, ond gwertlir teisenau, etc., ar yr oll o'r Canadian Pacific trains. Mae rhai yn myned a basged o fwyd i'w canlyn, ac yn prynu yn unig gwpanaid o de neu goffi yn y stations ar y daith. Mae Cerbydau y Trefedigaethwr ("Colonist" Cars) wedi eu cymhwyso at gysgu yn y nos, yn rhydd o unrhyw gost. Nid yw y cerbydau yn arferol wedi eu upholsdrio, a gwell ydyw myned a gobenydd a cwrlid (rug). Y peth sydd i'w feddwl wrth "Outfit," cynwysa matras, curtains, a gobenydd, etc., gellir eu prynu am tua 10s gan oruchwyliwr y Caniadan Pacific, yn y porthladd lle y glenir cyn cychwyn ar y daith ar y rheilffordd.



Ffordd mae Ymfudwyr yn Teithio.—Oddimewn i Gerbyd Trefedigaethwr ar y Canadian Pacific.

## Clud-Gelfi (Baggage).

**Rhybudd Neillduol i Deithwyr.**—Deisyfir ar Deithwyr nodi yn ofalus reolau y Cwmpeini ynghylch y "Baggage" er mwyn arbed iddynt eu hunain drafferth ac anghyfleusdra.

Gwisgoedd, a pethau eraill personol ac sydd yn angenrheidiol ar y daith, ystyrir y cyfryw fel baggage, a dylid eu hamgau o dan glo mewn cist (trunk), valises, bags, a pethau tebyg.

**LABELIO Y BAGGAGE.**—Y mae o bwys neillduol fod pob darn o'r Baggage yn cael ei labelio yn llawn, gyda y labels sydd yn cael eu rhoddi adeg y bookio. Packages i'r State Rooms: dylent gael eu labelio gyda **"Wanted"** labels, ac ni ddylent fod yn fwy na 15 modfedd o uchder, 2 droedfedd o led, a 3 troedfedd a 6 modfedd o hyd. Baggage trwm, megys trunk, bags, etc. (rhai fydd yn cael eu rhoddi yn ngheudod—hold—y llong) dylid rhoddi arnynt labels **"Not Wanted."** Dylid llenwi y labels hyn yn ofalus gyda llawn enw y teithiwr, enw yr agerlong, dyddiad hwylio, ac enw y lle maent yn myned, wedi ei ysgrifenu yn glir. Pob baggage, pa un ai gyda "Wanted" neu "Not Wanted," dylai fod y labels arnynt **yn dangos llythyren gyntaf enw olaf y teithwyr,** neu, gwell eto, dylai fod y llythyren yn cael ei phaentio mewn lle amlwg ar y packages. Mae'r baggage yn ddarostyngedig i gael ei archwilio gan y Tolldy (Customs) yn y porthladd lle y glenir yn Canada, felly

dylai y packages fod wedi eu gwneud i fyny fel ag y gellir eu hagor yn rhwydd. Mae ystyriaeth ofalus i'r pethau yma yn hyrwyddo symud y baggage, nid yn unig yn Lerpwl, ond hefyd ar y llong ar ol cyrhaedd Canada, ac felly arbed iddynt eu hunain drafferth ac anghyfleusdra.

**GYRU BAGGAGE YN MLAEN LLAW.**—Pob baggage trwm, y sawl ddylid gael ei labelio yn llawn, gellir ei anfon i Office y Cwmpeini yn Lerpwl (24, James Street) un wythnos yn mlaen i ddyddiad hwylio, a gyru post-card i'w hysbysu, i'r cyfeiriad uchod, yn rhoddi dyddiad, yr adeg fe'i hanfonir a'r nifer o packages a'r ffordd y maent yn cael eu gyru. Os bydd teithwyr yn myned ar fwrdd y llong yn Belfast anfoner y baggage a post-card i'w hysbysu i'r Office yn Belfast (41, Victoria Street). **Talwch holl gostau ar y Rheilffordd yn Mhrydain yr adeg y danfonir y baggage i Lerpwl neu Halifax. Peidiwch a'u gyru "Carriage Forward."**

**SWM CANIATAOL O GLUD-LWYTH RHYDD A'R TALIADAU AM Y PETHAU FYDD DROS Y PWYSAU fel y canlyn:—**

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| AR Y LLONG | Saloon .. | 20 cu. ft. | yn rhad; | trosodd | 1/- | per cu. ft. |
| | 2nd Class | 20 | ,, | ,, | 9c. | ,, |
| | 3rd Class | 10 | ,, | ,, | 6c. | ,, |

| | | | |
|---|---|---|---|
| AR Y RHEILFFORDD. | 1st Class i bob pwynt | 150 lbs. yn rhad. | Codir tal am y pwysau fydd dros-odd o 12 y cant o'r pris fydd wedi cael ei dalu gan y teithiwr ar y rheilffordd pob 100 lbs. |
| | Colonist Class i bwyntiau yn Manitoba, Alberta, Saskatchowan, a British Columbia yn unig .. .. | 300 lbs. yn rhad. | |
| | Colonist Class i bwyntiau eraill yn Canada.. | 150 lbs. yn rhad. | |

Plant yn talu haner pris, caniateir iddynt haner y pwysau o'r clud lwyth rhydd yn mhob achos. **Nis gellir carlo yr un darn o baggage fydd dros 250 o bwysau gyda y passenger train,** ond rhaid ei anfon gyda freight neu y train slow ar draul y perchenog. Trefnwch gyda y Cwmpeini yn Lerpwl neu yn Belfast, am y prisiau i'w talu am y clud-lwyth fydd dros y pwysau ar y llong. Mae clud-lwyth (heavy baggage) trwm teithwyr yr ail radd a'r trydydd radd yn cael eu trosglwyddo gan Gynrychiolwyr y Cwmpeini, o orsaf y rheilffordd yn Lerpwl i'r llong yn rhydd o unrhyw dal; hyny yw, pan fydd clud-lwyth yn cydfyned a'r teithwyr ddiwrnod yr hwylio neu y diwrnod blaenorol. Wrth lanio o'r llong yn Canada dylai teithwyr hawlio y cwbl o'u clud-lwyth, ac ar ol myned trwy ymchwiliad y Tolldy (Custom) yn Canada, yna dylid eu cofrestru gan Swyddogion y Rheilffordd i ben y daith.

**DODREFN A DAOEDD TY, Etc.—Nis derbynir hwynt i'w cludo fel clud-lwyth rhad,** ond codir pris am danynt fel clud-lwyth dros y pwysau yn ol y prisiau uchod (os yn cydddod gyda y teithwyr). Y mae yn rhatach i'w gyru fel freight ar yr agerlong ac ar y train. Anfonir y pris iselaf am gludiad y pethau hyn trwodd i unrhyw ran o Canada, ond gwneud cais. Daoedd Sefydlwyr (Settlers' Effects): os byddant wedi bod mewn arferiad chwe' mis derbynir hwy i Canada yn rhydd o doll.

---

Printed at the Caxton Press, Bangor.